# Lleisiau Cymru ar fater...

# Lles




Y llynedd, helpodd Cyngor ar Bopeth dros 92,000 o bobl i ddatrys dros 459,000 o broblemau yng Nghymru. Mae hyn yn rhoi cipolwg unigryw i ni ar anghenion a phryderon pobl.

Problemau gyda budd-daliadau lles a chredydau treth yw'r rhai mwyaf cyffredin.

Mae ein data'n dangos y canlynol ar gyfer 2018 a 2019:



Roedd angen bron 47,000 o gleientiaid cymorth gyda phroblem budd-daliadau



Cawsom dros 400,000 o ymweliadau â'n tudalennau budd-daliadau a chredydau treth ar ein gwefan

Yn ystod y cyfnod hwn, fe wnaethom ni helpu pobl gyda bron i 207,000 o broblemau budd-daliadau a chredydau treth.



Mae budd-daliadau i bobl anabl yn parhau i fod yn y ddau safle uchaf yn gyffredinol o ran nifer cleientiaid a phroblemau.

## Nifer cleientiaid gyda gwahanol broblemau budd-daliadau




Daeth 18% o gleientiaid ESA a 21% o gleientiaid PIP atom i ofyn am help i apelio penderfyniadau ar eu cais.



Mae gan June nifer o broblemau iechyd, gan gynnwys angina, clefyd y galon ac mae hefyd yn dioddef o iselder. Yn dilyn hawliad PIP aflwyddiannus, aeth June i'w Chyngor ar Bopeth lleol am help i apelio yn erbyn y penderfyniad. Helpodd yr ymgynghorwyr June i ddod o hyd i dystiolaeth feddygol ategol a chafodd y penderfyniad ei wyrdroi'n llwyddiannus. Cynyddodd incwm blynyddol June gan ddros £ 6,000. Roedd June wrth ei bodd a dywedodd bod ei hiechyd meddwl a chorfforol wedi gwella'n sylweddol.

Roedd Credyd Cynhwysol wedi'i gyflwyno ym mhob ardal awdurdod lleol yng Nghymru erbyn Rhagfyr 2018. Bydd unrhyw hawliad newydd am y rhan fwyaf o fudd-daliadau oedran gweithio yn hawliad am Gredyd Cynhwysol.

Bob mis ers Ionawr 2018, rydym wedi gweld gostyngiad yn nifer y cleientiaid sy'n dod atom gyda phroblemau yn ymwneud â budd-daliadau etifeddol, a chynnydd cyfatebol yn nifer y cleientiaid sy'n dod atom gyda phroblemau yn ymwneud â Chredyd Cynhwysol.

Fe welson ni dros 10,000 o gleientiaid gyda bron i 28,000 o broblemau Credyd Cynhwysol. Mae nifer y cleientiaid â phroblem yn ymwneud â Chredyd Cynhwysol yn parhau i dyfu fel cyfran o'n cleientiaid budd-daliadau lles cyffredinol. Y llynedd, roedd cleientiaid â phroblem UC yn cyfrif am 21% o'r holl gleientiaid budd-daliadau lles yng Nghymru, i gymharu â 7% y flwyddyn flaenorol.




I bawb, am 80 mlynedd

For everyone, for 80 years

## Ein cleientiaid lles

Roedd **dros ddau draean** o'n cleientiaid anabl neu ein cleientiaid â chyflwr iechyd hirdymor angen help gyda budd-daliadau neu gredydau treth.




Mae 58% o'n cleientiaid budd-daliadau lles yn fenywod.

Y grŵp oedran sy'n gofyn am gymorth amlaf gyda phroblemau budd-daliadau a chredydau treth yw'r rhai rhwng 45 a 64 oed.

